*E.P.C. Welsh Drama Series, No. 49*

# Y TRYSOR CUDD

*Drama fer, yn nhafodiaith canolbarth Ceredigion, a gymer tua thri chwarter awr i'w chwarae.*

*Gan*

*D. LLOYD JENKINS.*



CARDIFF:

THE EDUCATIONAL PUBLISHING CO., LTD.

LONDON: 9, SOUTHAMPTON STREET, HOLBORN, W.C.1.

## CYMERIADAU.

RISIART MORYS Y BUARTH.

ANN—EI FERCH.

DAN—Y GWAS.

LISA—Y FORWYN.

JOHN.

## *RHAGAIR.*

*"A ddyweto pawb, gwir yw," a dywedai pawb a wyddai rywbeth am* RISIART MORYS *y Buarth mai dyn caredig oedd, cymwynaswr parod, cymydog di-ail : yn wir o bu Cristion erioed yn marchnata,* RISIART MORYS *oedd hwnnw. Na feddyliwn chwaith mai rhyw sant o'r purdan ydoedd. Yr un un oedd ef cyn ac wedi marw Marged ei wraig. Profedigaeth arw a fu honno iddo, ond gwelai, serch hynny,'r ymylon euraid, a diolchai am gael cadw* ANN *eu merch, er iddi druan bron a thorri ei chalon. Nid rhyfedd iddi'n bymtheg oed adael yr ysgol a gwneuthur ei goreu glas i lonni aelwyd ei thad. Gwn am rug y mynydd, gwn am rug y gors, a gwn mai blodeuyn yr aelwyd oedd* ANN. *Gwae y neb a'i torrai ! Ond pwy a feiddiai ?*

*Un gwas ac un forwyn fel rheol a fyddai yn y Buarth, ond teimlai* RISIART MORYS *ef ei hun yn heneiddio, ac yn rhyfedd iawn (yn wir, yr oedd yn beth rhyfedd), rhyw ddiwrnod, ychydig wedi calangaeaf daeth bachgen ieuanc chwech ar hugain oed heibio, gan holi am waith, ac yn naturiol fe'i cyflogwyd heb fawr trafferth. Ni wn i fawr iawn o'i hanes, ac nid yw hynny wahaniaeth chwaith, ond ei enw oedd* JOHN, *enw digon cyfarwydd beth bynnag. Aeth ef a* DAN *y gwas, a* LISA *'r forwyn yn gyfeillion mawr, ond yn lled fuan deallasant na fedrent ei ddeall ef yn llwyr. Pam ? Wel, gwell imi beidio a dywedyd.*

# Y TRYSOR CUDD.

[Yr Olygfa.—*Cegin amaethdy: dau ddrws, y naill yn arwain allan a'r llall i'r llofft. Ar y canol ceir lle tân—" tân ar lawr "—wrth reswm, a'r mŵg fel colofnau yn llenwi'r simdde fawr. Yn ymyl y tân gwelir ysgiw, ac o'i gwmpas ceir bwrdd hir a meinciau. Ar y chwith gwelir cwpwrdd a chloc yn ei ymyl, tra mae tresel ar y dde a llestri arni. Ynghrog wrth y nenbren gwelir ystlysau o gig moch. Goleuir yr ystafell gan y llusern sydd ar y bwrdd. Pan egyr yr olygfa y mae* Lisa *'r forwyn wrthi'n prysur baratoi swper.*]

LISA: Wel, dyma flwyddyn arall bron ar ben eto. Ma' Ffair Glangaea' wrth y drws, ac ma'r hen flwyddyn wedi myn'd ar garlam. Wn i, a gwyd mistir dipyn o 'nghyflog i? Fe ddyle wneud; dyle, achos 'rwy i wedi bod yn forw'n fawr dda iddo ar hyd y flwyddyn. Yn wir, 'rwy cystal a gwas iddo. Ma' ynte'n gwbod hynny hefyd. Hen undwp ydw i 'rwy'n cyfadde, ond, mawredd annw'l! 'do'sdim rhaid iddyn lyncu llyfyr cyn dysgu gw'ith'o!

DAN (*yn dyfod i mewn â llusern yn ei law. Diffydd y llusern, a rhydd hi o'r neilltu*) : Wel, Lisa, wn i ddim shwd wyt ti'n teimlo, ond 'do's dim gwahani'eth gen i ta'r byd a'r betws yn i w'bod e, 'rwy'i wedi blino.

LISA : Paid a thwyllo d'hunan. Eisie bwyd sy arnat ti.

DAN : Ma' eisie hwnnw arna'i hefyd. Odi'r cawl yn barod gyda thi ?

LISA : Odi ers meityn, ond gwell iti aros nes daw John a dy fistir i'r tŷ.

DAN (*mewn ymbil*) : Dere Lisa fach, dere ag e *'nawr* : dere wir, achos 'rwy wedi rhoi gwair i'r lloi drosot ti.

LISA : O, un cyfrwys wyt ti Dani. Roi di help imi roi peth i'r moch ? Fe gei dithe swper wedyn.

DAN : Fe helpa i di odro yn y bore, fe fydd hynny llawn cystal ?

LISA : O'r gore, ond cofia di wneud. (*Rhydd* LISA *ei swper i* DAN.)

DAN : Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun Lisa : dere mla'n.

LISA : Be sy'n bod arnat *ti* heno ?

DAN : Be sy'n bod hefyd : odw i'n edrych yn fwy rhyfedd nag arfer 'te ?

LISA : Na, 'rwyt ti'n edrych yn ddigon rhyfedd bob amser. I ble 'rwyt ti'n myn'd ? O's cwrdd heno ?

DAN : O's.

LISA : Aros di, 'ngwas i——Nos Iau——nago's 'te, a chyhoeddwyd yr un yn y Capel.

DAN : Ie, ond falle bod un yn yr Eglws.

LISA : Falle go fawr, g'lo'i ! A ! paid ti a meddwl fod Lisa'n dwp i gyd. Dwed Dani,——ddweda i wrth neb, i ble 'rwyt ti'n myn'd ?

DAN : Myn'd i botshan.

LISA : Dwed y gwir Dani.

DAN : Wel, myn'd i garu 'te. Wyt ti wedi dy foddloni 'nawr ?

LISA : Odw i, ond pwy eisie oedd arnat ti wneud y fath *fuss* o beth bach, dwed ? Gwilia di'r ciper, 'machgen i.

DAN : Fe wna i'n iawn â hwnnw, paid ti a phryderu dim.

LISA : 'Rwy'n siwr y byddi di, Dani, 'n priodi'r flwyddyn nesa'.

DAN : Ar pryd wyt ti, Lisa, 'n broffwyd 'te ?

LISA : Wel, meddwl 'rown i nag o'et ti ddim yn mynd i wneud dy gyflog 'ma leni.

DAN : Nagw i, a wna i ddim chwaith os na chwyd yr hen fachgen fy nghyflog i.

LISA : Faint wyt ti'n ga'l 'nawr ?

DAN : Dim digon i gadw gwraig, Lisa.

LISA : Faint 'te ?

DAN : Deg punt ar hugen, a choron o ern, a dim ffyrling yn fwy.

LISA : Taw sôn, 'rwyt ti'n ca'l yn lled dda ; wyddost ti faint yr w *i*'n ga'l.

DAN : Hanner can punt falle !

LISA : Gad dy fodder. Peder ar bymtheg, a hanner coron o ern.

DAN (*gan estyn ei lestr*) : Dere a chwarter 'i lond eto. (LISA *yn ei gymryd ar unwaith, ac yn ei lenwi.*) Chwarter ddwedes i !

LISA : Yf e i gyd, bachgen ; fe wnaiff les i ti. Nid yn amal fyddi di'n ca'l mwy nag yr wyt ti'n ofyn. . . Ond clyw fel yr w i wedi gwario.

DAN : Paid a bod yn hir 'te. (*Yn edrych ar y cloc.*)

LISA : Fe ges ddres newydd i fynd i gyrdde mawr Peniel, ac fe gostiodd honno dair sofren felen. Cofia di, mae'n un dda serch hynny. Wel, fe ges *hat* newydd, ac fe dales ddeg swllt ar hugen amdani.

DAN : Ble ma honno 'te ?

LISA : O, dim ond unwaith rw'i wedi gwisgo honno, ond 'rwy'n edrych yn dda ynddi, wyddost.

DAN (*yn hurt*) : O !

LISA : "O !" Pam, wyt ti ddim yn credu 'te ?

DAN (*yn edrych ar y cloc*) : Odw, odw, cer mla'n.

LISA : Faint ddwedes i'nawr ? O, ie'r *hat* a'r ddres. Wel dyna'r par o sgidie Sul ges i erbyn y

Gymanfa Ganu, fe gostion bum swllt ar hugen, ac am y clocs, a'r sgidie bob dydd, wel, fe elli di roi dwy bunt yn hawdd. Aros di i ni ga'l gweld. O ie, wyt ti'n cofio'r diwrnod es i a Shani'r Bwlch i ffair Awst Llanbed'? Wel, fe waries i chweigen ar ddim. Ond cofia di, rw'i wedi gofalu rhoi chweigen hefyd at y weinidog'eth.

DAN: A weli di mo honno rhagor! O's gyda thi rywbeth eto? Ma' gyda thi lawn digon yn barod, allwn *i* feddwl.

LISA: Wel Dani, rho eto ddwybunt ar gyfer y pethe erill.

DAN: Beth yw rheiny?

LISA: O, holi yw hynna. Wel 'nawr 'te, faint yw'r cyfan?

DAN: Wn i ddim wir, ma'r pethe erill 'na wedi 'nrysu i!

LISA: Cymer dipyn o bapur ag inc, fachgen.

DAN (*yn codi ar ei draed yn syn*): Lisa, dim o dy gaws di!

LISA: Dere, Dani bach, fe ofala i amdana ti. Dere, yr w' i am ga'l gwbod *yn iawn*. (*Daw â phapur ac inc i'r bwrdd.*) Dere, fydd scoler fel ti ddim munud, wyddost.

DAN (*yn edrych yn ofidus ar y cloc*): O! Lisa, yr wyt ti'n rhyfedd.

LISA: Falle 'mod i wir. Dere 'nawr, dere.

(*Y mae* DANI *druan wedi ei goncro. Enwa* LISA *'r gwahanol bethau yn lled gyflym, a chymer* DAN *gyfrif ohonynt. Yna, pan fo bron yn barod â'r cyfanswm, cofia* LISA *'n sydyn ei bod wedi anghofio'r pethau eraill! Yna aiff yr ymddiddan ymlaen. Rhoddir perffaith ryddid i'r chwareuwyr yn yr helynt hwn.*)

DAN : Ti a dy bethe erill ! Cha nhw ddim mynd i lawr yn y *bill !*

LISA : Ond ma rhaid iddyn nhw !

DAN (*yn sarrug*) : Wel, fe gân' fynd 'te, tase ti am roi popeth o'dd yn yr Arch !

LISA : Faint yw'r cyfan Dani ?

DAN : *Ten pounds, fifteen shillings, and no pence.* Dynes ddrud wyt ti, Lisa.

LISA : Dynes ddrud fydd Jane i tithe, 'machgen i !

DAN : Ie, dyna be rwy'n weld wir.

LISA : A beth tase ti'n gorfod talu am fwyd iddi hi a'r plant ? Ond gwell i ti fynd i garu 'nawr.

DAN : O, mi af i garu, paid a phryderu ; ond 'nawr 'rwy'n cofio, ma'n rhaid i mi weld mistir cyn mynd 'to.

LISA : Pam : wyt ti'n meddwl y cei di godiad cyn mynd ?

DAN : Dim perigl merch i. (*Cwyd oddiwrth y bwrdd, ac eistedd ger y tân, a chyn ei bibell.*)

LISA : B'le ma nhw cyd ? Odi John yn aros ?

DAN : Na, dw' i ddim yn credu.

LISA : Pam ?

DAN : Wel, rhyngot ti a fi Lisa, dw' i ddim yn credu ma gwas ffarm ddyle John fod. Mae e'n scoler da iawn wyddost.

LISA : Wel, 'do's dim rhaid iddo fod yn scoler mawr i dy guro di a minne, ag i fod yn onest wrthi ?

DAN : Nag o's, 'rwy'n cyfadde, ond nid fi yn unig sy'n dweyd, cofia di. Fe ddywedodd Jones y Scŵl fod e'n synnu fod y fath fachgen galluog wedi crwydro i'r ardal 'ma, na ŵyr neb yn iawn o b'le.

LISA : O, wir, 'rown i'n meddwl ma gwas ffarm oedd e wedi bod erio'd.

DAN : Dyna beth ma' ynte'n ddweyd hefyd, ond all e ddim cuddio popeth, weldi. Hwyrach i fod e wedi ca'l i godi ar y ffarm, ond ma'i ddwylo 'n 'i fradychu. (*Clywir sŵn traed, a daw* ANN MORYS *i mewn fel petai wedi bod am dro'r prynhawn yn y pentref.*)

LISA : Ddaethoch chi'n ol ?

ANN : Do. (*Gan edrych ar y cloc*) Fues i ddim yn hir hefyd, dofe ?

LISA : Naddo wir. Welsoch chi mo mistir a John o gwmpas yma ? Ma' Dani mewn brys mawr eisie mynd——

DAN : Paid a dweyd anwiredd Lisa. Ma 'da finne bethe erill i ga'l, cofia !

ANN : 'Rwy'n credu fod dy fistir yn dod. (*Daw* JOHN *ac yntau i mewn. Aiff* LISA *i baratoi swper eto, tra eistedd* ANN *a* DAN *wrth y tân.*)

LISA : Fynnwch chi swper 'nawr, mistir ?

RISIART : Na wna i, 'dos dim awr a hanner er pan gefes i fwyd ddwetha.

LISA : Wel, fe gaiff John y bwrdd iddo'i hun heno 'te. (*Aiff* JOHN *at y bwrdd i swpera.*)

DAN (*yn codi i fynd allan*) : Wel, mistir, fe ofynnodd Jones y Rhos i mi os y cai e fenthyg eich mwnci chi 'fory.

LISA : Wyddwn i ddim fod mwnci gyda chi, mistir !

DAN : Bydd dawel ferch, mwnci ceffyl 'odd y dyn yn i feddwl.

RISIART : I b'le mae e'n mynd 'te ?

DAN : Wel, 'rwy'n meddwl 'i fod e'n mynd i briodas 'i ge'nder 'fory, ac ma'i fwnci e'n lled fach.

RISIART : O caiff, caiff. Wyt ti wedi addo mynd ag e iddo heno ?

DAN (*mewn tipyn bach o benbleth*) : Wel——ie, ma'n well imi ei ga'l heno, os nad yw e'n wahani'eth gyda chi.

RISIART : Aros 'te, cei e 'nawr, falle na fydda i ddim wedi codi bore fory.

DAN : O'r gore mistir, wir. (*Paratoa'r ddau i fynd allan, ond wrth fynd, gofyn* DAN *yn lled*

*ddistaw.*) Allwn i ddim ca'l benthyg chweigen tan 'fory ?

RISIART : Cei, cei. (*Gwêl nad oes ddigon yn ei logell, yna detgly'r cwpwrdd, ac o'r god tyn sofren. Fe gly'r cwpwrdd eto, ond gedy'r allwedd ar ol.*) Hẃre. Dyma sofren i ti : fe gewch eich cyfloge i gyd 'fory——hynny yw, cymaint ag sydd i chi. Wel, dere ynte. (*Aiff y ddau allan.*)

ANN: Gwell i minne fynd i newid y dillad 'ma wir. (*Aiff allan â'i het, etc.*)

LISA : John, glywsoch chi mistir yn dweyd y caen ni'n cyfloge fory ?

JOHN : Do.

LISA : Ydych chi'n mofyn codiad, John ?

JOHN : Na, dw i ddim yn mynd i ofyn chwaith.

LISA : O, rŷch chi'n mynd i aros 'te ?

JOHN : Arhoswch i ga'l gweld.

LISA : Wel wir, dw i ddim yn mynd i aros os na cha i bum punt ar hugen. Beth ych *chi*'n ddweyd ?

JOHN : O, 'rŷch chi'n haeddu hynny wir.

LISA : Odw——Ma'n rhaid i mi roi bwyd i'r moch hefyd.

JOHN : Cewch chi Lisa, fe ofala i amdana f'hun yn iawn.

LISA : Wnewch chi ?

JOHN : Gwnaf, gwnaf ; cewch chi.

(*Aiff* LISA *allan, a chlywir y bwcedi yn clindarddan, a chân hithau bwt o hen alaw. Yn awr ac eilwaith*

*cwyd* John *ei olygon oddiar y bwrdd, ac edrych ar y cwpwrdd. Yna, o'r diwedd aiff ato, egyr ef, cymer afael o'r god, tyn ryw dair sofren allan ; rhydd y god yn ol, a chly'r cwpwrdd eto. Cuddia'r arian yn ei lawes, ac aiff ymlaen â'i swper yn hamddenol. Yn lled fuan daw* Ann *i mewn, ac â i eistedd ger y tân. Ennyd o ddistawrwydd.*)

ANN : 'Rŷch chi'n dawel iawn heno, John ?

JOHN : Odw i ? Wel, 'do's gen i fawr iawn i'w ddweyd. Fe fydde'n dda gen i pe bai gennyf gystal tafod a Dan.

ANN : Ma' Dan wedi ei freintio y tu hwnt i'r cyffredin. Weles i'r fath siaradwr ag e erio'd. Mae e fel melin wynt. Hen gwmni rhagorol yw e, rhaid cyfaddef.

JOHN : Wel, yr w' i wedi treulio blwyddyn eitha' diddorol yn 'i gwmni, ac yn wir fe fydd chwith garw gyda fi ymadel ag ef. Ond fel hyn y mae hi yn y byd, ac yr ydw i'n ddigon cyfarwydd a tharo ffarwel â hen gyfeillion erbyn hyn.

ANN : Odych chi ?

JOHN : O'r annw'l, odw. Ma'r hen fyd yma yn gwneud dyn yn galed iawn. Ro'dd mam yn arfer dweyd hynny, ac yr w' i'n credu 'i geirie hi 'nawr.

ANN : Sefwch chi, b'le ma'ch mam yn byw ?

JOHN (*mewn tipyn o benbleth*) : Yn——yn Llanelech.

ANN : O ! rown i'n arfer meddwl mai yn Llanorwg yr o'dd hi'n byw.

JOHN : Wel ie, dyna lle'r o'dd hi, ond fe symudodd.

ANN : Pryd ?

JOHN : Yn o ddiweddar.

ANN : Ie, ma'ch tad wedi marw ?

JOHN : Odi, odi.

ANN : Druan o'ch mam.

JOHN : Ie, a druan o 'nhad hefyd. Efe o'dd yn dwyn ein beichie ni, ond fe dorrodd 'i galon.

ANN : Pam, John ?

JOHN : Wel, Ann, fe wyddoch chi gystal a minne na thorrodd gwaith asgwrn cefn neb, ond y ma siom wedi torri llawer calon. Fe garech chi ga'l gwbod mwy o'r hanes mi wn, ond chewch chi ddim : 'alla' i ddim. Yr w i' n ceisio anghofio'r hanes, ac felly peidiwch a fy mlino. (*Egyr bapur newydd. Ennyd o ddistawrwydd.*)

ANN : 'Rŷch chi'n hynod hoff o ddarllen, John, ond ŷch chi ?

JOHN : O, odw, 'rwy'n ca'l llawer iawn o ddiddordeb a chysur wrth ddarllen. Hen gyfell da yw llyfyr.

ANN : 'Do's dim rhyfedd hefyd, oherwydd 'rŷch chi wedi ca'l tipyn o ysgol.

JOHN : Tipyn bach, falle, dim rhyw lawer.

ANN : A ! peidiwch chi a 'nhwyllo i, John, 'rŷch chi wedi ca'l tipyn go lew.

JOHN : Na, sut y gallwch chi ddweyd hynny ?

ANN : Ma'n ddigon hawdd deall. Fe ddywedodd y Scŵl hefyd wrthyf yr un peth.

JOHN : Y Scŵl ! Be gebyst ŵyr e o'm hanes i ?

ANN : Wel, 'rŷch chi wedi darllen pob llyfyr sydd gydag e'n 'i lyfyrgell, ac yr ydych chi wedi synnu llawer un pan siaradsoch chi nos Fercher yn y Cyfarfod Llenyddol. 'Rwy'n synnu na fyddech chi wedi siarad ynghynt. Cofiwch chi, yr w *i* wedi ca'l tipyn bach o ysgol, ond yr w' i'n sicr eich bod *chi* wedi ca'l mwy, ac y ma'r bobol yn gobeith'o yr arhoswch chi am flwyddyn eto yn yr ardal 'ma.

JOHN : Wel, wna i ddim yn wir.

ANN : Gwnewch, John, fe arhoswch.

JOHN : Na wna i wir. Efalle y bydda i oddiyma nos yfory.

ANN : Pam, John ? O's gyda chi rywbeth yn ein herbyn ni fel teulu ?

JOHN : Dim byd, Ann. Yn wir, 'rwy'n hoff iawn o'ch tad. Fe garwn i fod cystal Cristion a'ch tad, a 'dyw e ryfedd yn y byd gen i 'i fod e'n flaenor yn Peniel. Dyn da yw'ch tad.

ANN : 'Rwy'n gobeith'o nad o's gyda chi ddim byd yn f'erbyn i ?

JOHN (*gan chwerthin*): O's debyg iawn! Yr ŷn ni'n anghydweld mor amal, ond ŷn ni?

ANN: Wel, John, pam nad arhoswch chi? Ydych chi eisie codiad yn eich cyflog?

JOHN: Dim o gwbl. 'Rwy'n eithaf hapus fel hyn.

ANN: Wel wir, John, nid *gwas* ydych chi, oherwydd sôn am godiad yn barhaus y bydd y gweision fel rheol. Cofiwch chi, dw i ddim yn 'u beio nhw chwaith. Arian ydyw 'u hunig hapusrwydd hwy, ond y ma'n amlwg nad arian yw eich hapusrwydd chi.

JOHN: Na, nid yw arian yn rhoi llawer o hapusrwydd i mi.

ANN: Wel, John, pam nad arhoswch chi?

JOHN: O! Ann, allwch chi ddim a 'neall i. Fedra i ddim aros yn unlle'n hir.

ANN: Wel, pam, John?

JOHN: O! peidiwch a 'mlino i Ann. Arhosa i ddim.

ANN: Gwnewch John.

JOHN: Na wna.

ANN (*gan godi ar ei thraed, a mynd i eistedd wrth y bwrdd gyda* JOHN): John——John.

JOHN: Wel?

ANN (*mewn llais crynedig*): John, arhoswch.

JOHN: Na wna ddim.

ANN: John——arhoswch——er fy——mwyn i.

JOHN (*mewn syndod*): Beth ddwedsoch chi, Ann? (*Ni etyb* ANN *: cuddia ei hwyneb â chadach.*) Ann——Ann——'ro'wn i'n meddwl——ond feddylies i ddim fod pethe fel hyn.

ANN: O, John, arhoswch er fy mwyn i.

JOHN: Ann fach, beth dda ydw i i chi? Na, 'dŷch chi ddim yn fy neall i wir. Gwell yw i mi fynd. Arhosa i ddim wir.

ANN: Na, John, chewch chi ddim mynd!

JOHN (*Clywir sŵn rhywun yn rhuthro i'r tŷ*): Ust! (*Aiff* ANN *i eistedd ger y tân.*)

DAN (*yn dyfod i mewn yn wyllt*): Weles i shwd beth erio'd!

JOHN: Be sy'n bod Dan?

DAN: Be sy'n bod, wir! Os bydd dyn eisie mynd i rywle, ma pob drws yma'n yfflon! B'le ma'r mwrthwl a'r hoelon?

JOHN: Be sy'n bod, fachgen?

DAN: O'r argo'l fawr! Ma' drws y twlc yn yfflon, a'r moch wedi dianc ar Lisa! (*Chwilia gŵd mewn cornel, a cha afael yn yr hoelion a'r mwrthwl.*)

JOHN: Garet ti ga'l help, Dan?

DAN: Na, diolch i'r annw'l, 'rŷn ni wedi ca'l nhw'n ol, ac fe hoelia i nhw'n ddiogel 'nawr, 'rwy'n siwr. Ddon' nhw ddim allan ragor ta'r cythrel ynddyn nhw! (*Daw* RISIART MORYS *i mewn â gwên ar ei wyneb.*)

RISIART : Dere, Dan bach, ma' Lisa'n dy ddisgw'l di.

DAN : Disgw'l wir ! Ma' digon o chwant arna i i'w chau hi i mewn gyda nhw. Pwy eisie gweiddi " *Wheet i bach* " sydd arni nes 'i bod hi yn y twlc ? Ma' hi fel pe bai yn cadw Jubilee ! Yr hen ffwl ! (*Aiff allan.*)

RISIART : Rhyw dderyn rhyfedd yw Dan. (*Aiff i eistedd ger y tân. a chyn ei bibell tra eistedd* JOHN *wrth y bwrdd yn darllen*). Be sy yn y papur heno, John ?

JOHN : Wel hanes y streic sydd ynddo fwyaf.

RISIART : Ydyn nhw wedi penderfynu dod allan ?

JOHN : Nag ŷn eto, ond 'rwy'n credu ma' allan y dôn' nhw.

ANN : Ma' llawer iawn i'w ddweyd wedi'r cyfan dros aros yn y wlad, on'd o's e 'nawr? (*Daw gwên dros wyneb* JOHN.)

RISIART : 'Dw i wir ddim yn deall bechgyn y pylle glo, nag w i'n onest nawr.

JOHN : Pam nad ych chi, Risiart Morys, yn 'u deall nhw ?

RISIART : Wel——wel——wel ie.

ANN : Cofiwch chi'n nhad, holi am 'u hawlie ma'r bobol, ond te fe, John ?

JOHN : Ie.

ANN : Ac os na chaiff dyn ddigon o hawl i fyw ar y ddaear yma, wel, ma'n well iddo fynd i rywle arall. Ond fe fydde'n well gen i weithio mêr fy esgyrn ar hyd y caëe 'ma na mynd i lawr am noson i berfedd y ddaear. Wedi'r cyfan, 'rŷn ni'n ddiogel iawn yn yr hen wlad. 'Do's fyth ofan cwymp arnon ni, ac fel 'ro'dd John a minne'n cytuno gynne, 'do's dim gwahani'eth faint o arian gaiff dyn, 'all rheiny fyth a'i wneud yn hapus.

RISIART : Na, na, wrth reswm. Ynon ni ma'r hapusrwydd. Ond sut ma' ca'l gaf'el ynddo— dyna'r gamp, ond te fe, John ?

JOHN : Ie, ie.

RISIART : Ond mae e bob amser yn ein hymyl ni hefyd. Dyma enghraifft i chi'n awr, i brofi'r pwnc o'r 'Sgrythur. 'Rŷch chi'n cofio'r dyn hwnnw yn y ddameg yn aredig. Yn ol bob tebyg, 'do'dd e erio'd wedi bod yn aredig y cae ond rhyw ddiwrnod dyma swch yr hen arad' drwyddo, a dyma fe'n ca'l gafel mewn——

ANN : Trysor——Ie. Pwy, tybed, odd wedi'i guddio fe ?

RISIART : Wel, Ann fach, pwy wyt ti'n meddwl sy'n rhoddi llawenydd yn ein calonne ni ?

ANN : Duw.

RISIART : Ie, wrth reswm. Wel, rhywun tebyg, wyt ti'n gweld, o'dd wedi cuddio'r trysor yn y maes, on te fe, John ?

JOHN: Hwyrach, a hwyrach ma' rhywun digon annhebyg hefyd.

ANN (*fel mellten*): Ie, 'nhad, chi'n gweld, falle ma' rhywun o'dd wedi mynd i guddio'i dalente o'dd e? (*Edrych* JOHN *yn syn ar* ANN, *a daw gwên dros ei wyneb.*)

RISIART: Wel, wrth reswm, rhaid inni beidio ag esbonio pob cymal, weli di. Un gwirionedd mawr sydd ymhob dameg. Pwynt mawr y ddameg yna i mi, beth bynnag, yw fod y dyn wedi ca'l gafel yn y trysor yn i ga'i hunan, a 'dyw e fawr wahani'eth mewn gwirionedd pwy cuddiodd e.

ANN: Go anamal y bydd dyn yn ca'l gaf'el mewn trysor wrth aredig yn y dyddie 'ma. John, gawsoch chi rywbeth erio'd?

JOHN: E? Naddo fi. Wel do, fe gefes nyth ambell i hen lygoden. "*The best laid schemes of mice——*"

ANN: Ond y ma'n rhaid cydnabod hefyd fod y wlad yn iach, ac yn wir, be all dyn wneud wedi colli i iechyd?

JOHN: 'All pawb ddim aros yn y wlad.

ANN (*gyda gwên*): Ond fe all rhai.

RISIART: Ydych chi'n meddwl, y gallech chi, John, aros byth yn y wlad?

JOHN: Cwestiwn lled galed yw hwnna, Risiart Morys. Wel, pe bawn i'n ca'l aros byth yma,

fe arhoswn, ond am na cha i aros fyth felly, 'dyw e fawr wahani'eth gen i b'le'r af i.

RISIART : O ! be sy'n eich rhwystro chi i aros 'te ?

ANN : 'Dos dim, 'nhad, dim yn y byd.

RISIART : Shwd y gwyddost *ti*, Ann fach ?

ANN : Gwn yn iawn. (JOHN *yn teimlo'n anesmwyth.*) Ond 'y nhad, yn wir ma'n rhaid i ni roi tipyn bach o godiad yn 'u cyfloge nhw. Dyma Dan a Lisa 'nawr, 'chewch chi byth well rhai na nhw. Dw i ddim yn deall fod John yn gofyn am godiad, ond fe gaiff ynte, ac 'rwy'n siwr yr arhosith e.

JOHN : Ann ! rw' i wedi dweyd wrthych chi o'r blaen, arhosa' i ddim ! (*Edrych* ANN *yn benisel iawn. Ennyd o ddistawrwydd.*)

RISIART : Peth rhyfedd yw i chi fynd oddiyma heb yr un rheswm yn y byd. Weles i yr un gwas yn gwneud tro fel hyn â mi o'r bla'n. Blwyddyn i'r wythnos nesa' y daethoch chi aton ni, ac yr wy'n credu eich bod chi erbyn hyn wedi gwneuthur eich cartre' yma, ond ŷch chi ?

JOHN : Wel——fe all dyn fel fi wneuthur ei gartre' ymhob man——os cartre' hefyd. Yr w' i wedi colli golwg ar gartre', Risiart Morys. Duw sy'n gwbod ! (*Cwyd ar ei draed, a chymer ei gap yn ymyl, gan baratoi i fynd allan.*) Na wir, dw' i ddim yn mynd i aros. Dw' i ddim yn deall fy hun yn iawn, ond arhosa' i ddim.

ANN (*gan godi ar ei thraed a sefyll rhyngddo a'r drws*): 'Nawr, John, arhoswch dipyn bach. Eisteddwch i lawr inni ga'l siarad ynghylch y cyfan.

JOHN: Na, welwch chi Ann, ma'n rhaid i mi fynd i'r siop cyn cau. Rhaid yn wir. Fe gewch chi siarad am y peth heno a 'fory. Ond gadewch i mi fynd 'nawr.

ANN: Wel——o'r gore 'te (*gedy iddo fynd.*) Peidiwch chi a bod yn hir. (*Aiff* JOHN *allan. Cofia* ANN *yn sydyn am rywbeth.*) "O, ma eisie——' (*Egyr y drws a geilw ar* JOHN *i ddychwelyd. Clywir* JOHN *yn ateb: yna dywed* ANN *yn ddistaw wrth ei thad.*) 'Nhad, rhowch sofren i John fel rhodd. 'Rwy'n credu ei bod yn well i ni ga'l tipyn o siwgwr yma hefyd. (*Daw* JOHN *i mewn.*)

RISIART: Wel, ti sy'n gwbod ore.

ANN: A ddewch chi a phedwar pwys o siwgwr o'r siop, John?

JOHN: Do', ar unwaith, ond gwell yw i chi dalu 'fory. (*Yr hyn wnaeth i* JOHN *feddwl am y talu oedd gweld* RISIART MORYS *yn chwilio ei logell am yr allweddau.*)

RISIART: Rhoswch, John——b'le' rw' i wedi rhoi nhw 'te? (*Yna fe'u gwêl yng nghlo'r cwpwrdd.*) O! fe'u gadewes nhw, 'rwy'n gweld. (*Egyr y cwpwrdd, a chwilia'r god.*)

JOHN : Gwell yw i chi dalu 'fory, Ann.

ANN : O'r gore. Ond 'rhoswch funud.

RISIART (*yn wyllt*) : Helô ! Ann, fuest ti'n benthyca rhywbeth o'r god yma ? (*Daw â hi i'r goleu.*)

ANN : Naddo fi. Pam ?

RISIART : Wel, ma 'na rywun wedi bod yma.

ANN : 'Nhad !

RISIART : Ie, 'dwyt ti ddim tamed lles o siarad, ma 'na arian wedi mynd.

JOHN : Beth ?

ANN : Pryd ? Faint ?

RISIART : Wel, yr oedd yna ddeg punt gynne, ond 'do's yna ddim ond chwech yn awr.

ANN : Faint roesoch chi i Dan ?

RISIART : Sofren.

ANN : Ydych chi'n siwr ?

RISIART : Odw'n berffaith siwr——b'le ma nhw ? (*Aiff yn wyllt i'r drws. a geilw,*) Lisa ! Lisa ! (*Clywir rhywun yn ateb yn y pellter.*) Odi Dan yna ? Dewch i'r tŷ eich dau ar unwaith. (*Clywir y ddau yn ateb :* " 'Rŷn ni'n dod.") Fu rhai ohonoch chi allan ?

ANN : Naddo, 'rŷn ni wedi bod yn y tŷ drwy'r nos.

JOHN (*fel petai yn ennill nerth*) : Wel, ma' hyn yn beth rhyfedd, ond yw e ?

RISIART (*yn benisel*): Be gynllw'n o'wn i'n gad'el yr allwedde ar ol?

ANN: Wel, 'nhad, es *i* ddim â nhw.

RISIART (*yn agor y cwpwrdd eto, ac yn edrych i mewn*): Ma' nhw wedi mynd.

JOHN: Wel, Morys, dyma fi i chi, chwiliwch fi os ydych chi'n credu mai fi sydd wedi mynd â nhw.

RISIART: Pwy sy'n dweyd hynny? 'Rwy'n eich credu chi ar eich gair, 'machgen i.

ANN: Ydych chi'n siwr ma' deg punt o'dd gyda chi?

RISIART: Ann fach, beth wyt ti'n feddwl, dwed?

ANN: Gobeith'o nad yw Lisa wedi mynd â nhw. (*Gyda hyn clywir sŵn y drws allan yn agor a* LISA *a* DAN *yn ymddadleu ynghylch y moch. Deuant i mewn.*)

DAN (*gan sychu'r chwŷs oddiar ei dalcen*): Diolch ddweda i!

RISIART: Lisa, dere yma.

LISA: Be sy?

RISIART: Fuost ti yn hwn heno? (*Gan gyfeirio at y cwpwrdd.*)

LISA: Naddo fi. (*Mewn syndod.*) Pam?

RISIART: Fuost ti, Dan?

DAN: Yr argo'l fawr! (*Gan gyfeirio at* LISA.) B'le ges i amser i fynd iddo?

LISA : Be sy'n bod, mistir, ydych chi wedi colli rhywbeth ?

RISIART : Odw, gwaetha'r modd. Faint roddes i iti gynne, Dan ?

DAN : Sofren.

RISIART : Dyna oeddwn inne'n feddwl.

DAN (*yn ei thynnu o'i bwrs*) : Ie, ie, dyma hi i chi.

RISIART (*wrth* LISA) : Wyt ti'n siwr, Lisa fach, na fuest ti ddim yn twrio yn y cwpwrdd ?

LISA (*yn torri allan i wylo*) : Naddo fi, mistir, beth own i'n——

DAN : Cer, yr hen fabi, pwy sy'n dweyd dy fod ti wedi 'u dwyn nhw ?

LISA (*yn llefain eto*) : Ddyges i ddim eriod——

DAN : Paid a llefen yn uchel, Lisa, ne fe ddaw'r moch ma's eto !

ANN : Chware teg i Lisa. Lisa fach, 'do's yma neb yn meddwl dy fod ti wedi dwyn yr arian.

RISIART : Nag o's, 'y merch i. Ma' hyn yn beth rhyfedd——ond falle mai fi sy'n camgymryd wedi'r cyfan. 'Rwy'n eich rhoi chi'n rhydd, beth bynnag. Efalle y dof o hyd iddyn nhw eto.

DAN : Ma'n bryd i fi fynd, allwn i feddwl. (*Aiff allan.*)

RISIART (*yn eistedd yn benisel wrth y bwrdd.* LISA *yn llefain o hyd*) : Pam wyt ti'n llefen, Lisa ?

ANN : Ie, Lisa fach, 'do's neb yn meddwl am eiliad eich bod chi wedi mynd â nhw. (*Aiff* LISA *allan yn araf gan wylo.*) 'Nhad, roesoch chi arian i John i fynd i'r siop ?

RISIART : Bum i bron ag anghofio. (*Estyn bunt iddo.*) Cymerwch chi hynna, John, fel arian poced.

JOHN (*mewn syndod*) : Na chymera'n wir. (*Yn ei rhoddi ar y bwrdd.*) Dim o gwbl.

ANN : Tewch sôn, John ; cymerwch hi ar unwaith.

JOHN : Na wna ; 'do's dim o'i hangen arnaf, ond diolch i chi'r un peth.

RISIART : Cymerwch hi, 'machgen i; cymerwch hi ; falle bydd ei hangen arnoch eto. Pwy sy'n gw'bod ? (*Cymer* JOHN *yr arian yn drist. Cly* RISIART *y cwpwrdd yn ddiogel.*) B'le'r aeth Dan ? Rwy'n siwr iddo fynd heb y mwnci eto. (*Aiff allan i edrych.*)

ANN : Gwell yw i finne edrych os ydyw popeth yn iawn ar y llofft. (*Aiff allan i gyfeiriad y llofft.*) Cofiwch chi ddod adre' yn gynnar, John.

JOHN : Gwnaf, gwnaf.

(*Y mae* JOHN *yn barod i fynd i'r pentref, ond nid â. Egyr y drws allan, ac nid oes sŵn neb i'w glywed o gwmpas. Aeth* LISA, *mae'n debyg, tua'r beudy, ac wedi'r cyfan nid oes neb a fedr gydymdeimlo'n well weithiau nag anifail ffel. Ysmociai* RISIART

MORYS *yn dawel yng nghwmni'r gaseg las. Yn dawel? Wel, na, nid yn hollol felly, ond edrychai ar yr ochr oleu gan obeithio y deuai o hyd i'r arian eto. Yn sicr ni phallai ei ffydd yng ngonestrwydd ei blentyn a'i wasanaethyddion. Caea* JOHN *y drws drachefn, a syll i gyfeiriad y cwpwrdd; aiff ato; tyn yr arian o'i lawes, ac edrych arnynt. Cais agor y cwpwrdd yn daer, ond y mae ynglô! Gwelwa, a syll ar yr arian yn ei law o hyd. Cais agor y cwpwrdd eto, ond y mae'r cyfan yn ofer. Gyda hynny daw* ANN *i mewn.*)

ANN (*yn synnu gweld* JOHN *yno o hyd*) : John! Aethoch chi ddim——(*Ni etyb* JOHN.)——Ydych chi'n mynd i'r pentre?——Be sy'n bod? (*Ni ddywed* JOHN *yr un gair.*) John (*gan gyfeirio at y cwpwrdd*) beth oeddech chi'n geisio'i wneud,——ai ceisio rhoi'r arian yn ol oe'ch chi?

JOHN (*mewn syndod*) : Beth?—Ie, ie; ond fedra i ddim.

ANN : Medrwch, John, mae allwedd gennyf i!

(*Rhydd* JOHN *yr arian i* ANN; *egyr hithau'r cwpwrdd i'w rhoi'n ol.*)

ANN : Peidiwch a phryderu dim. Fe fedrwn guddio'r helynt hwn yn rhwydd.

JOHN (*yn benisel*) : O! Ann, ma'n rhaid i mi fynd.

ANN : Ond cofiwch chi ddod yn ol yn gynnar.

JOHN : Na, Ann! rwy'n dweyd wrthych chi, ma'n rhaid i mi fynd!

ANN : I b'le, John bach ? (*Rhydd ei llaw ar ei ysgwydd.*)

JOHN (*mewn llais crynedig*) : Mi af yn ol bob cam i'r hen aelwyd at fy mam. (*Rhydd ei law ar ei hysgwydd, a dywed yn benderfynol*), Rwy'n mynd!

LLEN.

